# Ymateb i Flaenoriaethau Cynulliad Cenedlaethol Cymru ar gyfer y Pwyllgor Iechyd, Gofal Cymdeithasol a Chwaraeon Awst 2016

## 1.0 Cyflwyniad

1.1 Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn croesawu'r cyfle i helpu i lywio blaenraglen waith Pwyllgor Iechyd, Gofal Cymdeithasol a Chwaraeon Cynullid Cenedlaethol Cymru yn ystod y 5ed Cynulliad, yn enwedig yn ystod y 12-18 mis nesaf.

1.2 Mae Cyngor ar Bopeth Cymru wedi llunio adroddiad o'r enw 'Paying for and accessing social care in Wales: a people's perspective'. Mae'r adroddiad yn tynnu sylw at nifer o feysydd sy'n peri pryder, ac eir i'r afael â rhai ohonynt wrth i Deddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014 (Deddf GCLl 2014) gael ei chyflwyno. Fodd bynnag, mae yna nifer o feysydd sydd angen rhagor o sylw neu sydd angen eu monitro'n barhaus fel yr amlinellir isod.

1.3 Gofynnwn i'r pwyllgor ystyried y canlynol fel rhan o'i raglen waith:

- pa mor effeithiol yw'r gwasanaethau Gwybodaeth, Cymorth a Chyngor o ran bodloni gofynion Fframwaith Sicrhau Ansawdd Gwybodaeth a Chyngor Cymru (FfSAGCh) a bod y wybodaeth a ddarperir o ansawdd sydd wedi'i sicrhau;
- adolygu nifer y ceisiadau a geir ar gyfer ailasesu dan Ddeddf GCLl 2014 ac ystyried yr angen am broses apêl;
- ymchwilio i'r system ar gyfer talu am ofal yng Nghymru;
- adolygu pa mor effeithiol y bu Llywodraeth Cymru wrth fynd i'r afael â materion iechyd meddwl;
- nodi a hyrwyddo arferion gorau ym maes gofal cymdeithasol;

- cadw golwg fanwl ar y gwaith o weithredu Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol 2015.

# Argymhellion blaenraglen Cyngor ar Bopeth Cymru

## Gwybodaeth a Chyngor

1.4 Rydym yn croesawu'r gofyniad dan Ddeddf GCLl 2014 i awdurdodau lleol sefydlu gwasanaethau Gwybodaeth, Cyngor a Chymorth (GCCh). Ystyrir y gwasanaethau'n ganolog i lwyddiant y broses o bontio i'r system gofal a chymorth dan Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) 2014. Mae cod ymarfer Rhan 2 Deddf GCLl 2014 sy'n cynnwys y gwasanaethau GCCh yn rhoi pwyslais ar sicrhau bod y gwasanaethau'n hygyrch, ac rydym yn cefnogi hyn yn llwyr. Mae Cyngor ar Bopeth Cymru yn credu y dylid parhau i adolygu hyn er mwyn sicrhau bod y gwasanaeth yn parhau'n gwbl hygyrch, yn enwedig ar gyfer y rhai sydd wedi'u hallgáu'n ddigidol er mwyn sicrhau nad yw'r newid yn niweidiol iddyn nhw.

1.5 At hynny, mae'n ofynnol i wasanaethau GCCh fodloni safonau cenedlaethol ar gyfer darparu gwybodaeth a chyngor fel y nodir yn y Fframwaith Sicrhau Ansawdd Gwybodaeth a Chyngor ar gyfer Cymru. Credwn y dylai'r Pwyllgor ystyried pa mor effeithiol yw'r gwasanaethau GCCh o ran diwallu gofynion y FfSAGCh a bod y wybodaeth a ddarperir o ansawdd sydd wedi'i sicrhau. Dangosodd ein gwaith ymchwil nad oedd pobl yn gwybod lle i fynd i gael mynediad i wybodaeth a chyngor a'r ffordd orau o ddefnyddio'r wybodaeth a'r cyngor i'w helpu. Bydd sicrhau bod y gwasanaethau GCCh yn hawdd eu cyrraedd a darparu gwybodaeth a chyngor y mae ei ansawdd wedi'i sicrhau yn allweddol i lwyddiant Deddf GCLl 2014.

## Apeliadau a Chwynion

1.6 Mae gweithdrefnau clir a hygyrch ar gyfer apelio a chwyno yn hanfodol er mwyn sicrhau bod gwybodaeth a gwasanaethau'n diwallu anghenion y bobl sy'n eu defnyddio a nodi unrhyw broblemau neu faterion sydd angen mynd i'r afael â nhw. Yn wahanol i Ddeddf Gofal Lloegr 2014, nid yw Deddf GCLl 2014 yn cynnwys proses apelio, ond gall unigolion ofyn i benderfyniadau ar sail cymhwysedd gael eu hadolygu neu eu hailasesu mewn rhai amgylchiadau. Credwn nad yw hyn yn ddigonol ac ni fydd yn sicrhau y bydd pobl sydd angen cymorth yn cael y cymorth hwnnw ar yr adeg gywir.

1.7 Mae ein gwaith ymchwil yn dangos bod pobl yn amharod i apelio yn erbyn penderfyniad neu wneud cwyn am benderfyniadau'n ymwneud â gwasanaethau gofal cymdeithasol neu wasanaethau cyhoeddus yn fwy

cyffredinol, ac ni fyddant yn debygol o ofyn am ailasesiad. Credwn y gallai hyn gael effaith negyddol ar iechyd a lles pobl.

1.8 Amlygodd Pwyllgor Iechyd a Gofal Cymdeithasol y 4ydd Cynulliad yr angen i fonitro'r ffordd y caiff Deddf GCLl 2014 ei rhoi ar waith yn ofalus. Ymrwymodd Mark Drakeford, y Gweinidog Iechyd a Gwasanaethau Cymdeithasol ar y pryd, i werthuso'r Ddeddf yn ystod y Pumed Cynulliad, gan ganolbwyntio ar asesu a chymhwysedd er mwyn pennu a yw'r amcanion yn cael eu cyflawni. Credwn y dylai'r pwyllgor flaenoriaethu hyn a chytuno ar amserlen i'w hadolygu, gan gynnwys nifer yr ailasesiadau y gofynnir amdanynt neu a gwblheir.

## Talu am ofal

1.9 Mater arall i'r Pwyllgor ei ystyried yw'r ffordd y telir am ofal preswyl yng Nghymru. Roedd y mater hwn i fod i gael ei ddiwygio ym mis Ebrill 2016, fodd bynnag, arweiniodd oedi yn y broses ddiwygiadau yn Lloegr a'r gwaith diwygio sy'n dal i fod ar waith i'r system les at gyhoeddi bod yna oedi i ddiwygiadau yng Nghymru. O gofio bod disgwyl i nifer y bobl sydd angen gofal mewn lleoliad preswyl gynyddu'n sylweddol, mae Cyngor ar Bopeth yn credu y dylai'r pwyllgor ymchwilio i'r system o dalu am ofal, gan ddefnyddio tystiolaeth bresennol i wneud argymhellion i Lywodraeth Cymru o ran symud diwygiadau yn eu blaen cyn mis Ebrill 2020 pan fydd disgwyl i Lywodraeth y DU gyflwyno newidiadau i Loegr.

## Iechyd Meddwl

1.10 Un o flaenoriaethau Llywodraeth Cymru yw gwella iechyd a lles meddyliol pobl yng Nghymru. Dylai'r pwyllgor ystyried pa mor weithredol y mae Llywodraeth Cymru wedi bod wrth fynd i'r afael â'r flaenoriaeth hon ac ystyried beth arall y gellir ei wneud er mwyn sicrhau bod gwasanaethau ledled Cymru gan gynnwys gwasanaethau cymdeithasol, cymorth gallu ariannol, darpariaeth cam-drin domestig a chymorth i ddioddefwyr yn cael eu hintegreiddio er mwyn cael gwybod pwy sydd â phroblemau iechyd meddwl a rhoi cymorth iddynt.

1.11 Yn ein hymateb i ymgynghoriad Llywodraeth Cymru ar y cynllun cyflawni ar gyfer iechyd meddwl gwnaethom ofyn am i'r cynllun cyflawni gael ei ddiweddaru i gynnwys:

1.12 Croesgyfeirio cliriach i Ddeddf Gwasanaethau Cymdeithasol a Llesiant (Cymru) a Deddf Trais yn erbyn Menywod, Cam-drin Domestig a Thrais Rhywiol (Cymru) lle y bo'n briodol, gan roi sylw penodol i'r canlynol:

- Cael gwybod pwy sy'n dioddef trais domestig yn ystod beichiogrwydd a'r cyfnod amenedigol a rhoi cymorth iddynt er mwyn sicrhau eu bod yn cael y cychwyn gorau mewn bywyd.
- Y dyletswyddau newydd ar awdurdodau lleol i asesu a chynorthwyo'r rhai ag anghenion gofal cymdeithasol a lles yn yr ystâd ddiogeledd
- Rôl newydd gwasanaethau gwybodaeth, cyngor a chymorth i hybu iechyd a lles

1.13 Cynnwys gwasanaethau cyngor, gwybodaeth a chymorth dyled a budd-daliadau lles fel dull ataliol, ac yn wyneb diwygiadau lles, lliniaru'r effeithiau ar bobl â phroblemau iechyd meddwl.

## Rhannu Arferion Da

1.14 Yn ystod ein gwaith ymchwil, gwelsom enghreifftiau o arfer da, ac er bod yna rai fforymau i'w cael eisoes ar gyfer rhannu arfer da, teimlwn y gellid gwneud rhagor i dynnu sylw at yr enghreifftiau gorau o'r prosesau a'r arferion sy'n gwella darpariaeth gofal cymdeithasol yng Nghymru a'u rhannu gan fod hyn hefyd yn galluogi ymarferwyr a'r cyhoedd i ddysgu am y profiadau a'r ffyrdd gorau o weithio a'u rhannu. Gallai'r pwyllgor fod yn eiriolwr dros annog y gwaith o rannu arferion gorau ac ystyried y ffyrdd gorau o hyrwyddo'r enghreifftiau hyn ledled Cymru.

## Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol

1.15 Mae dangosyddion cenedlaethol Deddf Llesiant Cenedlaethau'r Dyfodol wedi'u cytuno erbyn hyn, bydd y gwaith o graffu ar y dangosyddion yn hanfodol wrth helpu i lywio'r cerrig milltir cenedlaethol. Yr hyn sy'n arbennig o bwysig yw effaith cynhwysiant/gallu ariannol ar iechyd a lles pobl. Dylai'r pwyllgor gadw golwg fanwl ar y dangosyddion lles a chraffu ar ymateb Llywodraeth Cymru iddynt, gan gynnwys yr angen i ddiwygio dangosyddion a gweithredu newidiadau polisi lle bo angen.

## Rhaglen waith tymor hir

1.16 Rydym yn cefnogi'r meysydd a amlinellir yn y rhaglen waith tymor hir ar gyfer y pwyllgor, yn benodol, y gwaith o integreiddio gwasanaethau iechyd a gofal cymdeithasol a gofal sylfaenol, a chaethiwed i hapchwarae, gan gynnwys darparu gwasanaethau cymorth, a'r camau y gellid eu cymryd i leihau niwed.

1.17 Mewn blynyddoedd diweddar, mae hapchwarae wedi gweddnewid yn llwyr, yn 2016 mae ar gael 24/7 ac fe'i hystyrir yn fath derbyniol o weithgarwch hamdden. Mewn cyfnodau o galedi, mae grwpiau agored i niwed yn fwy tebygol o droi at ymddygiad peryglus fel ffordd o ddianc o'u sefyllfa neu i ariannu eu ffordd o fyw. Mae Cyngor ar Bopeth Casnewydd yn cynnig Gwasanaeth Cymorth Hapchwarae gan ddarparu cyngor a gwybodaeth am ddim i unrhyw un sy'n poeni am hapchwarae. Mae'r gwasanaeth ar gael i'r rhai sy'n wynebu problemau gyda hapchwarae, teulu a chyfeillion ac unrhyw un a allai fod mewn perygl o ddatblygu problem. Byddem yn hapus i drafod y gwasanaeth hwn yn fanylach â chi petai gan y pwyllgor ymholiad am gaethiwed i hapchwarae.

## Cymorth ar Bopeth Cymru

1.18 Mae Cyngor ar Bopeth yn elusen annibynnol sy'n cwmpasu Cymru a Lloegr, gan weithredu fel Cyngor ar Bopeth Cymru yng Nghymru gyda swyddfeydd yng Nghaerdydd a'r Rhyl. Mae yna 19 cangen leol o Cyngor ar Bopeth yng Nghymru, ac mae pob un ohonynt yn aelodau o Gyngor ar Bopeth Cymru, gan ddarparu gwasanaethau o 375 a mwy o leoliadau.

1.19 Dau nod gwasanaeth Cyngor ar Bopeth yw:

- darparu'r cyngor sydd ei angen ar bobl ar gyfer y problemau y maen nhw'n eu hwynebu
- gwella'r polisïau a'r arferion sy'n effeithio ar fywydau pobl

1.20 Mae'r cyngor y mae'r gwasanaeth Cyngor ar Bopeth yn ei ddarparu am ddim, yn annibynnol, yn gyfrinachol, yn ddiduedd, ar gael i bawb waeth beth fo'u hil, rhyw, anabledd, cyfeiriadedd rhywiol, crefydd, oedran neu genedl igrwydd ac mae ei ansawdd wedi'i sicrhau.

1.21 Mae gan y Gwasanaeth Cyngor ar Bopeth gyfrifoldeb i gynrychioli defnyddwyr yng Nghymru o ganlyniad i newidiadau Llywodraeth y DU i dirwedd defnyddwy [1]. Ers 1Ebrill 2014 mae hyn yn cynnwys swyddogaethau a chyfrifoldebau statudol i gynrychioli defnyddwyr gwasanaethau post ac ynni.

[1] Ar 1 Ebrill 2013 trosglwyddwyd cyfrifoldeb dros gynrychiolaeth defnyddwyr o Defnyddwyr Cymru i'r Gwasanaeth Cyngor ar Bopeth (gan gynnwys Cyngor ar Bopeth Cymru) yn dilyn adolygiad Llywodraeth y DU or tirwedd defnyddwyr. O 1 Ebrill 2014 mae hyn yn cynnwys swyddogaethau a chyfrifoldebau statudol i gynrychioli defnyddwyr y swyddfa bost ac ynni.

